# Y SILLYDD RHWYDD;

I DDYSGU

# Silliadu a Darllen y Gymraeg;

**MEWN FFURF NEWYDD:**

WEDI EI DDOSPARTHU YN Y MODD ESMWYTHAF, ER RHWYDD-INEB, IDD YR YSGOLAIG IEUANC; AC WEDI EI AMCANU ER GWASANAETH IDD YR

## *YSGOLION SABBATHAWL*:

YN DDWY RAN.

---

GAN D. HUGHES, NANTCAREDIG.

---

*Yr ail argraffiad, wedi ei ddiwygio.*

---

"Dysgwch y rhai ni's medrant."—BIBL.

---

CAERFYRDDIN:

ARGRAFFWYD DROS Y CYHOEDDWR, GAN M. JONES, YN HEOL-Y-PRIOR.

—o—

1839.

49.

# CYMERADWYADAU.

Yr ydym yn ystyried y "SILLYDD RHWYDD" y goreu a welsom eto, at wasanaeth yr YSGOLION SABBATHAWL.

Y mae cyflëad yr Egwyddor, detholiad a rhaniad y sillau, gosodiad y gwersi, eglurdeb y geiriau, rhwyddineb y gwersi cyntaf, a chynydd graddol eu lliawssilliad, wedi eu cyflëu ynddo yn ddoeth, i ateb i feddwl plentyn; wrth ystyried hyn, yn nghyd a'i ddull sobr, yr ydym yn ei ystyried yn deilwng o gael ei dderbyn yn yr YSGOLION, yn hytrach na dim o'r fath sydd wedi ymddangos.

EVAN EVANS, Nantyglo,
DAVID EVANS, Aberafon,
DAVID JONES, Treforus,
WILLIAM JENKIN, Cross Inn,
EVAN JONES, Rock,
DAVID JONES, Gelligroes.

—o—

Mae y "SILLYDD RHWYDD" yn dra manteisiol, i gynhorthwyo ieuenctyd ac oedolion, i silliadu a darllen yn rhwydd. Trwy silliadu a darllen y gwersi trefnus, rhwydd, a graddol hyn, buan y deuant i fod yn alluog i ddarllen y GYFROL YSBRYDOLEDIG.

WM. MORRIS, Coed-y-cymmer.

—o—

D. S. Barnwyd yn well rannu y Sillydd yn yr Argraffiad hwn, yn ddwy ran gyfartal; am hyny Pris y rhan gyntaf yw dwy geiniog, a'r Ail yr un gymmaint.

## Y SILLYDD RHWYDD, &c.

*Y prif Lythyrenau Rhufeinaidd.*

A B C CH D
DD E F FF G
H I L LL M N
NG O P PH R S
T TH U W Y.

*Y mân Lythyrenau Rhufeinaidd.*

a b c ch d dd e
f ff g h i l ll m
n ng o p ph r
s t th u w y.

Y prif Lythyrenau Italaidd.

***A B C CH D DD***
***E F FF G H I***
***L LL M N NG***
***O P PH R S T***
***TH U W Y.***

---

Y mân Lythyrenau Italaidd.

***a b c ch d dd e f***
***ff g h i l ll m n***
***ng o p ph r s t***
***th u w y.***

---

*Y Rhif-nodau.*

**1 2 3 4 5 6 7 8 9 0.**

*Y Llythyrenau yn Wrthwynebawl.*

**Y W U TH T S R PH P O NG N M LL L I H G FF F E DD D CH C B A.**

---

*Yr Egwyddor yn Gymmysgedig.*

**L DD C P G TH Y FF M D A NG R LL F CH O H W B N E U T PH S I.**

---

*Y Llafariaid.*

**a e i o u w y.**

---

*Y Cydseiniaid.*

**b c ch d dd f ff g h l ll m n ng p ph r s t th.**

*Geiriau o ddwy Lythyren.*

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| C | E | A | D | F | B | H | FF | M | O |
| c | e | a | d | f | b | h | ff | m | o |

---

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Ab | eb | ib | ob | ub | wb | yb |
| Ac | ec | ic | oc | uc | wc | yc |
| Ad | ed | id | od | ud | wd | yd |
| Af | ef | if | of | uf | wf | yf |

---

At yr un da yr af fi. Bu ef yn dda i mi. Cu yw ef i ni oll. Lle da yw ei dy ef. Y llu da a *a* i'r lle da. Ffo di at yr un da. Da fu ef i ni, a da yw ef i ni. Un da a chu yw ef.

---

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Ag | eg | ig | og | ug | wg | yg |
| Al | el | il | ol | ul | wl | yl |
| Am | em | im | om | um | wm | ym |
| Ap | ep | ip | op | up | wp | yp |

*Geiriau o ddwy Lythyren.*

**T Y N P U LL I DD CH G**
**t y n p u ll i dd ch g**

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| **Ba** | **be** | **bi** | **bo** | **bu** | **bw** | **by** |
| **Ca** | **ce** | **ci** | **co** | **cu** | **cw** | **cy** |
| **Da** | **de** | **di** | **do** | **du** | **dw** | **dy** |
| **Fa** | **fe** | **fi** | **fo** | **fu** | **fw** | **fy** |

**Bu yr un da, och! yn yr ing du. Yn dy le di, a mi, y bu ef yn yr ing. O! yr ing y bu ef. Y llu na bo yn dda, Ow! ow! a *a* i och. Bu yr un da ar ei lw. I'r lle da yr *a* y llu da.**

**Ng L Ph S R W Th**
**ng l ph s r w th**

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| **Ga** | **ge** | **gi** | **go** | **gu** | **gw** | **gy** |

*Geiriau o dair Llythyren, a Darlleniad*

I.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Ail | Bach | Call | Dal | Egr | Fall |
| ant | bai | cêg | deg | eich | fel |
| arch | bedd | cig | dim | ein | fro |
| awn | bod | côf | dig | ewch | fry |
| awr | byd | cun | dyn | ewn | fyr |

II.

Awn yn awr i gyd, at Fab Duw. Bydd dyn yn well o hyn, hyd byth. Nis gall un dyn, fod ddim yn well, heb hyn. Hêdd o hyd a fydd i hwn, sef, i ddyn da. Ond yr hwn na wna air Duw, sydd ffôl.

III.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Ffau | Gan | Hâd | Iach | Lladd | Mab |
| ffoi | gau | hâf | iâr | llai | mae |
| ffon | gên | hêdd | iau | llon | math |
| ffôs | gwn | hîr | ION | llun | mil |
| ffydd | gwr | hon | IOR | llyw | môr |

IV.

Ti yw ein Tad ni, yr hwn wyt yn y nef. Mae pob dyn na wna dy air yn ffôl. Ond pob un a wna dy air sydd gall. IOR a rydd hêdd hîr i hwn yn y nef.

## *Geiriau o dair Llythyren, a Darlleniad.*

### V.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Nac | Oen | Pen | Sâf | Tad | Wrth |
| neb | ofn | peth | sêr | tân | wyf |
| nef | oedd | plâ | sôn | taw | ŵyr |
| nid | oer | plu | sûr | tro | wyt |
| nôd | oes | pob | sydd | try | wyth |

### VI.

Byd byr yw y byd hwn, byd heb hêdd, heb fod yn lân, nac yn bur; byd lle y mae bai, a lle y mae och, a chûr, a llef, ac ing. Mae pob dyn sydd heb fai, yn awr, yn y nef. Lle pur heb fai yw y nef.

### VII.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Arth | Gwg | llys | Nêr | pŷg | Swm |
| awch | Hên | Mêl | Ond | pŷs | Tâl |
| Bôd | hîn | mêr | Pêr | Sach | têg |
| bol | hyd | modd | pur | sef | Urdd |
| Chwi | Llwch | mur | pwy | sêl | Ynt |

### VIII.

Y sôn am ddyn da sydd hoff; y dyn da yw ef, yr hwn a rydd ei hun i Fab Duw. Y bedd a fydd ein tŷ ni. Ni ddaw neb yn ol o'r bedd. Y byd a ddaw a fydd byth, yr hwn a fydd ein tŷ ni.

## *Geiriau o bedair Llythyren, a Darlleniad.*

### IX.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Aent | blin | clod | chwyth | gardd |
| awdl | brech | clôch | Eithr | glân |
| Baich | bron | crêd | Fflam | grâs |
| balch | Coel | chwâl | ffordd | gwel |
| barn | cerdd | chwech | Gair | Hael |

### X.

GAIR ein Duw ni a saif byth. Hwn yw gair y ffydd. Gwir yw y gair. Hwn yw yr hâd da. Gair doeth, gair dwfn, gair pur a glân. Nid fel gair dyn, ond (fel y mae yn wir) yn air Duw. Rho barch mawr i hwn.

### XI.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Haul | lloer | Parch | Rhan | Taith |
| hawdd | Mawl | pawb | rhew | tardd |
| Iaith | mawr | poen | rhodd | torth |
| iawn | merch | porth | Saif | trwy |
| Lledr | Nerth | pridd | serch | Wybr |

### XII.

MAWR yw Duw, a mawr ei nerth. Nid oes neb mor fawr ag ef. Gŵyr ef beth sydd mewn dyn. Ei ffordd sydd yn y môr. Y mae ein holl ffyrdd ger ei fron ef. Nid ein ffyrdd ni yw ei ffyrdd ef. Y mae ei ffyrdd ef yn uwch na'n ffyrdd ni.

*Geiriau o bump Llythyren, a Darlleniad.*

XIII.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Blaen | cnawd | chwedl | Gwerth | Maent |
| blaidd | CRIST | chwegr | Haint | maint |
| braich | croes | Drain | hwynt | Neidr |
| brawd | chwaer | draig | Llestr | Plant |
| Clust | chwant | Ffrwyth | llwybr | plaid |

XIV.

DA yw Duw i bawb. Nid fel ein craig ni yw eu craig hwynt. Ei law ef a wnaeth hyn oll. Gwnaeth bob peth er ei fwyn ei hun. Gwnaeth bob peth yn dêg yn ei bryd. Nid mewn congl y gwnaed hyn.

XV.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Praidd | Tlawd | brwyn | Mawrth | Trawst |
| Rhaid | traed | Chwyrn | Prawf | traeth |
| rhwyd | Bloesg | Gwawr | Rhwydd | treigl |
| Saint | blwydd | gwraig | rhwym | trwsgl |
| sawdl | braint | gwraidd | rhisgl | trwyn |

XVI.

POB pren da sydd yn dwyn ffrwyth da; ond y pren drwg sydd yn dwyn ffrwyth drwg. Nis gall y pren da ddwyn ffrwyth drwg; na phren drwg ddwyn ffrwyth da. Gwnewch y pren yn dda, bydd ei ffrwyth yn dda.

## *Geiriau o ddwy Sill, a Darlleniad.*

### I.

| | | | |
|---|---|---|---|
| AB-ER | ad-eg | add-fed | ag-wedd |
| a-berth | ad-en | add-fwyn | all-wedd |
| ab-sen | ad-fyd | a-ddysg | am-can |
| ac-w | a-dref | ael-od | am-gen |
| a-chos | ad-rodd | ael-wyd | aml-der |
| a-chub | ad-waen | a-fal | am-ser |
| ad-ail | a-ddas | af-lan | an-adl |
| a-dar | a-ddaw | af-lwydd | ang-el |

### II.

AM DDUW.

1. MAE Duw yn mhob man ar un-waith; yn llen-wi nef a dae-ar, tir a môr; yn uchel, ac yn is-el; yn ôl, ac yn mlaen; mae yn gryf; yn gall-u pob peth: wedi crëu pob peth, yn dal pob peth; ac yn hawdd y gwna efe nef a dae-ar yn ddim. Wele, mawr yw Duw!

### III.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Ang-en | ar-fer | aw-el | bell-ach |
| ang-eu | Ar-glwydd | aw-ydd | ben-yw |
| an-ial | ar-wain | Bach-gen | ber-wi |
| an-ian | as-en | balch-der | blaen-or |
| an-nwyd | as-gwrn | bar-lys | blas-us |
| a-raf | at-af | barn-wr | blew-yn |
| ar-all | at-tal | basg-ed | blin-der |
| ar-bed | at-eb | bed-ydd | bodd-i |

*Geiriau o ddwy Sill, a Darlleniad.*

IV.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Bodd-lon | bydd-in | cal-on | car-iad |
| bor-eu | byw-yd | cam-fa | car-tref |
| brad-wr | Cad-arn | cam-wedd | ceis-io |
| bren-in | cad-naw | can-fod | cel-wydd |
| buch-edd | cad-w | can-lyn | cell-wair |
| bu-gail | cae-ad | can-ol | cen-ad |
| bych-an | caff-ael | can-u | cer-byd |
| by-ddar | cal-ed | can-ys | cerdd-ed |

V.

2. Ni wyra Duw farn, ond gwna farn iawn i bob dyn: yn ol ei waith y barn efe bob dyn; a saif ei farn ef byth. Gŵyr ef bob peth, ni all neb gelu dim oddi wrtho, na da na drwg; gŵyr fryd pawb; gwaith pawb; dull pawb; a phob peth, yn mhob dyn, bob amser. Oni wna Barn-ydd yr holl ddae-ar farn?

VI.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Cer-ydd | clust-iau | cor-lan | cryf-der |
| cil-fach | clyw-ed | cor-on | cudd-io |
| cin-iaw | cnawd-ol | cor-sen | cul-ni |
| clodd-io | cod-i | cor-wynt | cwp-an |
| cledd-yf | cof-io | craff-u | cyb-ydd |
| clef-yd | col-yn | cred-u | cyf-lawn |
| clod-fawr | coll-ed | cref-ydd | cym-mod |
| clor-ian | cordd-i | crog-i | cy-wir |

## *Geiriau o ddwy Sill, a Darlleniad.*

### XIII.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Gwel-y | Hael-der | hedd-wch | hoel-io |
| gwen-yn | hallt-u | hedd-yw | hoff-der |
| gwin-llan | ham-dden | hef-yd | hog-i |
| gwr-ol | han-es | heib-io | hol-i |
| gwres-og | han-fod | hel-aeth | hos-an |
| gwrth-od | hardd-wch | hel-fa | hud-ol |
| gwyn-fyd | hawdd-gar | hir-aeth | huf-en |
| gyr-fa | heb-rwng | hir-bell | hy-fryd |

### XIV.

5. Mol-wch yr Ar-glwydd. Fy en-aid mola di yr Ar-glwydd. Mol-af yr Ar-glwydd tra bydd-wyf byw; can-af i'm Duw, tra fydd-wyf. Canys da yw canu i'n Duw ni; o-her-wydd hy-fryd yw, ïe, gwedd-us yw mawl. Mol-wch ef yn ol aml-der ei fawr-edd.

---

### EMYN.

De'wch hen ac ieuainc de'wch,
At Iesu mae'n llawn bryd;
Rhyfedd amynedd Duw,
Ddysgwyliodd wrthym c'yd;
Aeth yn brydnawn, mae yn hwyrâu,
Mae drws trugaredd heb ei gau.

## *Geiriau o ddwy Sill, a Darlleniad.*

### XV.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Iach-au | Llad-rad | llech-u | lli-aws |
| iech-yd | lladd-fa | llef-ain | lloer-awg |
| IE-SU | llaes-u | lleith-ig | llof-rudd |
| ieu-anc | llaf-ar | llen-gudd | llon-ydd |
| in-sel | llan-w | lle-tŷ | lludd-ias |
| is-el | llar-iaidd | lleth-u | llun-iaeth |
| is-gell | lla-wen | lleu-ad | llwyth-og |
| Iu-ddew | lla-wer | llew-od | llud-w |

### XVI.

AM AIR DUW.

1. GWYN fyd y rhai per-ffaith eu ffordd, y rhai a rod-iant yn nghyf-raith yr Ar-glwydd. Dysg i mi, O Ar-glwydd, ffordd dy ddeddf-au, a chadw-af hi hyd y diw-edd. Gwna i mi ddeall, a chadw-af dy gyf-raith; ïe, cadw-af hi â'm holl gal-on.

### XVII.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Mab-an | march-nad | meg-ys | mil-wr |
| mach-lud | mar-w | mel-in | mill-dir |
| madd-eu | mawr-edd | mel-us | mod-fedd |
| mag-u | med-wr | mellt-en | mod-rwy |
| mal-u | medd-wl | merch-ed | mod-ryb |
| mall-der | medd-wyn | merth-yr | moeth-us |
| mam-aeth | medd-yg | mes-ur | mol-iant |
| man-gre | meg-in | mil-gi | mor-wyn |

*Geiriau o ddwy Sill, a Darlleniad.*

XVIII.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Mud-an | nam-yn | neu-add | nodd-fa |
| mwyn-edd | naw-fed | new-id | noeth-ni |
| myn-wes | nef-ol | new-ydd | nof-io |
| myn-ydd | neg-es | new-yn | nos-on |
| Na-bod | neill-du | nif-er | nos-waith |
| na-ddo | neith-ior | ni-nau | nych-dod |
| nadd-u | ne-mawr | nith-io | nydd-u |
| nag-e | nerth-ol | niw-ed | ny-ni |

XIX.

2. Llus-ern yw dy air i'm traed, a lle-wyrch i'm llwybr. Hedd-wch mawr a fydd i'r rhai a gadw-ant dy gyf-raith, ac nid oes dram-gwydd idd-ynt. Deu-ed fy ngwedd-i ger dy fron: gwar-ed fi yn ol dy air. Geir-iau yr Ar-glwydd yd-ynt eir-iau pur-ion, fel ar-ian wedi ei goethi mewn ffwrn bridd.

XX.

| | | | |
|---|---|---|---|
| O-bry | og-of | Pab-ell | pall-u |
| oed-ran | ol-ew | pad-ell | pap-yr |
| oer-fel | ol-rhain | pa-hyd | parch-us |
| oer-llyd | ol-wyn | pal-adr | par-ddu |
| oer-wynt | o-nid | palf-es | par-ed |
| of-er | or-iau | pal-is | par-od |
| ofn-i | och-ain | pal-mant | pech-od |
| ofn-us | od-iaeth | pall-iant | ped-war |

## *Geiriau o ddwy Sill, a Darlleniad.*

### XXI.

| | | | |
|---|---|---|---|
| pell-en | per-ffaith | plent-yn | preg-eth |
| pen-aeth | per-ygl | pleth-u | pren-iau |
| pen-bleth | peth-au | plu-en | pres-eb |
| pen-nill | pib-ell | pobl-oedd | prid-werth |
| pen-nod | plâ-au | poen-us | pridd-o |
| pen-tref | plant-a | poeth-der | pri-od |
| perch-en | plan-u | por-fa | prôf-i |
| per-fedd | pleid-gar | porth-i | pro-ffes |

### XXII.

3. Gair ein Duw ni a saif byth. Hyd onid êl y nef a'r ddae-ar heib-io, nid â un iod nac un tip-yn o'r gyf-raith heib-io, hyd oni chwbl-âer oll. Cyf-raith yr Ar-glwydd sydd ber-ffaith, yn troi yr en-aid. Deddf-au yr Ar-glwydd sydd un-iawn; o'u cadw y mae gwobr la-wer.

### XXIII.

| | | | |
|---|---|---|---|
| pro-phwyd | Rhad-lawn | rheib-us | Rhuf-ain |
| pryd-ferth | rhaff-au | rheid-us | rhwyg-o |
| pryd-nawn | Rhag-fyr | rhe-ol | rhwym-o |
| pryf-ed | rhag-or | rhew-i | rhy-budd |
| pryn-u | rhag-rith | rhif-o | rhydd-âu |
| pur-deb | rhed-eg | rhod-io | rhy-fel |
| pwyll-og | rhed-yn | rhodd-wr | rhyw-iog |
| pysg-od | rheg-u | rhost-io | rhyf-yg. |

## *Geiriau o ddwy Sill, a Darlleniad.*

### XXIV.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Sab-bath | sel-io | Sul-gwyn | Ta-bwrdd |
| sach-wisg | serch-og | swp-er | tad-maeth |
| sad-wrn | ser-en | swydd-og | taer-ni |
| sant-aidd | serth-edd | sych-ed | taf-od |
| seb-on | siar-ad | syl-faen | tai-og |
| sef-yll | sid-an | syl-wedd | tal-aeth |
| se-gur | sir-iol | syn-iad | tal-cen |
| seib-iant | sugn-o | syn-wyr | tal-iad |

### XXV.

AM BECHOD.

Trwy un dyn y daeth pech-od i'r byd. Trwy gam-wedd un y daeth barn ar bob dyn. Fel y cau-er pob gen-au, ac y byddo yr holl fyd tan farn Duw. Nid oes neb cyf-iawn, nac oes un. Nid oes neb yn de-all; nid oes neb yn ceis-io Duw.

### XXVI.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Tam-aid | tel-yn | tom-en | tros-edd |
| tan-baid | ter-fyn | traeth-u | tru-an |
| tar-an | ter-fysg | tra-llod | trys-or |
| tar-w | tes-tun | tra-noeth | tuch-an |
| taw-el | teu-lu | traws-edd | twyll-o |
| teg-an | teyrn-as | trefn-us | tyb-ied |
| teg-wch | tir-ion | troed-fedd | tyr-fa |
| teil-wng | toll-fa | troed-io | tyw-ydd |

## *Geiriau o ddwy Sill, a Darlleniad.*

### XXVII.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Uch-el | un-ig | wyl-o | yn-fyd |
| ud-gorn | un-waith | wyn-eb | ys-bryd |
| ud-iad | urdd-as | wyth-nos | ys-gafn |
| uf-ydd | urdd-iad | Yd-wyf | ys-gol |
| Uff-ern | Wb-ain | yf-ed | ys-gub |
| ug-ain | weith-iau | y-ma | ys-gŵyd |
| un-deb | wel-e | ym-daith | ys-gwydd |
| un-iawn | wybr-en | ym-ladd | ys-pwng |

### XXVIII.

AM GEISIO DUW.

Ceis-iwch yr Ar-glwydd, tra y' galler ei gael ef; gel-wch arno tra fyddo yn agos. Y sawl a'm car-ant I, a garaf finau; a'r sawl a'm ceis-iant yn fore a'm cânt. Yr awr hon gan hyny, O feib-ion, gwran-dewch arnaf; canys gwyn eu byd a gadw-ant fy ffyrdd I.

---

### EMYN.

Bugail Israel, sydd ofalus,
Am ei dyner anwyl ŵyn;
Mae'n eu galw yn groesawus,
Ac yn eu cofleidio'n fwyn.

Dewch, blant bychain, dewch at Iesu,
Ceisiwch wyneb Brenin nef;
Hoff eich gweled yn dynesu,
I'ch bendithio ganddo ef. M. D.

## *Geiriau o dair Sill, a Darlleniad.*

### XXIX.

| | | |
|---|---|---|
| A-berth-u | ad-na-bod | am-ddi-fad |
| a-bwyd-yn | a-ddew-id | a-myn-edd |
| ach-lys-ur | add-fwyn-der | an-es-mwyth |
| a-chub-wr | add-ol-iad | an-ial-wch |
| a-dar-wr | add-un-ed | an-llad-rwydd |
| ad-eil-ad | ael-od-au | a-raf-wch |
| a-der-yn | af-len-did | ar-ed-ig |
| ad-fer-iad | af-rad-lon | ar-fer-iad |

### XXX.

#### AM Y PORTH CYFYNG.

Ewch i mewn trwy y porth cyfyng: canys ëang yw y porth, a llydan yw y ffordd sydd yn arwain i ddystryw; a llawer yw y rhai sydd yn myned i mewn trwyddi. Ym-drech-wch am fyned i mewn trwy y porth cyfyng.

### XXXI.

| | | |
|---|---|---|
| Ar-glwydd-i | Bach-gen-aidd | bon-hedd-ig |
| ar-wydd-ion | ban-er-au | bor-eu-ddydd |
| as-en-au | basg-ed-aid | brad-ych-u |
| at-eb-iad | bed-ydd-io | brawd-le-oedd |
| a-thraw-iaeth | ben-dith-ion | breich-led-au |
| awd-ur-dod | blaen-or-i | bren-in-oedd |
| aw-el-og | blin-der-og | breudd-wyd-io |
| aw-ydd-us | bodd-lon-deb | bu-geil-iaid |

## *Geiriau o dair Sill, a Darlleniad.*

### XXXII.

| | | |
|---|---|---|
| Bw-hw-man | caeth-iw-ed | cel-wydd-og |
| bwr-iad-u | cal-ed-wch | cen-ad-wr |
| bwyst-fil-od | cal-on-au | cen-edl-aeth |
| byd-ol-deb | cam-syn-ied | cen-fig-en |
| by-gyth-iad | cam-wedd-au | cer-ydd-wr |
| byw-iol-iaeth | can-lyn-iad | cil-dyn-rwydd |
| Cad-ern-id | car-ed-ig | cin-iaw-a |
| cadw-ed-ig | cel-an-edd | clod-for-i |

### XXXIII.

AM IESU GRIST.

Yn y de-chreu-ad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair. Hwn oedd yn y de-chreu-ad gyda Duw. Trwyddo ef y gwnaethpwyd pob peth ; ac hebddo ef ni wnaethpwyd dim a'r a wnaethpwyd. Ynddo ef yr oedd bywyd, yr hwn oedd oleuni dynion.

### XXXIV.

| | | |
|---|---|---|
| Cnawd-ol-iad | cred-ad-yn | Dad-gudd-iad |
| cofl-eid-io | cyb-ydd-dod | dae-ar-ol |
| col-edd-u | cyd-wyb-od | da-ion-us |
| col-om-en | cyf-iawn-der | dal-en-au |
| coll-ed-ig | cyf-lawn-der | dall-in-eb |
| cor-on-iad | cy-wil-ydd | dam-meg-ion |
| cre-ad-ur | chwenn-ych-u | dan-fon-iad |
| CRE-AWD-WR | chwerth-in-iad | dar-llen-iad |

## *Geiriau o dair Sill, a Darlleniad.*

### XXXV.

| | | |
|---|---|---|
| Dar-par-u | der-byn-iad | dif-rif-wch |
| dat-tod-iad | dew-in-iaeth | dig-of-aint |
| de-all-us | di-al-ydd | din-as-oedd |
| de-chreu-ad | di-an-af | dir-gel-wch |
| ded-wydd-wch | di-bris-io | doeth-in-eb |
| deg-ym-au | di-ddyfn-u | dol-ur-us |
| de-heu-wynt | di-e-gwan | dryg-ion-us |
| deis-yf-iad | di-fei-us | duw-iol-deb |

### XXXVI.

2. A'r angel a ddy-wed-odd wrthynt, Nac ofnwch: Canys wele, yr wyf fi yn myn-eg-i i chwi new-ydd-ion da o la-wen-ydd mawr, yr hwn a fydd i'r holl bobl. Canys ganwyd i chwi heddyw geidwad yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd.

---

### EMYN.

Gwyr ieuainc hardd eu gwedd,
A'r holl wyryfon glân,
Hen bobl yn min y bedd,
Plant bach yn llon eu cân,
Clodforent enw'r Arglwydd Dduw,
Ef o bob mawredd teilwng yw. M. D.

Diwedd y Ran Gyntaf.

## RHAN YR AIL.

### XXXVII.

| | | |
|---|---|---|
| Dwy-fron-eg | Ef-eng-yl | elf-en-au |
| dy-ddan-ydd | e-gin-yn | el-us-en |
| dyl-ed-wyr | eg-lwys-ig | en-ein-iad |
| dy-wed-odd | e-hed-ydd | er-fyn-iad |
| E-ang-der | eidd-ig-edd | es-geu-lus |
| ed-af-edd | eir-iol-aeth | es-gid-iau |
| e-di-far | eis-tedd-iad | es-gyn-iad |

### XXXVIII.

3. A hi a esgor ar fab, a thi a elwi ei enw ef IESU; o-ble-gyd efe a wared ei bobl odd-i-wrth eu pech-od-au. Ond pan ddaeth cyf-lawn-der yr amser, y dan-fon-odd Duw ei Fab, wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur dan y ddeddf; fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf, fel y der-byn-iem y mab-wys-iad. Yr hwn a'i rhoddes ei hun dros ein pech-od-au, fel y'n gwar-ed-ai ni odd-i-wrth y byd drwg pre-sen-ol.

### XXXIX.

| | | |
|---|---|---|
| Es-mwyth-der | ffet-an-au | gag-en-dor |
| es-tyn-iad | ffo-ad-ur | gal-ar-nad |
| e-tif-edd | ffol-in-eb | gall-u-og |
| eu-og-rwydd | ffurf-af-en | gel-yn-iaeth |
| ew-yll-ys | ffyn-non-au | glas-wellt-yn |
| ew-yn-u | ffyn-ad-wy | go-beith-io |
| Ffen-estr-i | Gaf-ael-u | god-in-eb |

*Geiriau o dair Sill, a Darlleniad.*

XL.

| | | |
|---|---|---|
| Go-fal-us | gor-phwys-fa | gwas-an-aeth |
| go-fid-us | GOR-UCH-AF | gwe-ddill-io |
| go-gon-iant | gres-yn-dod | gwedd-i-au |
| gol-eu-ni | grwg-nach-lyd | gwedd-w-dod |
| gol-yg-wr | gwa-lian-ol | gwe-fus-au |
| gor-chym-yn | gwa-hardd-iad | gwein-id-og |
| gor-fol-edd | gwar-ed-wr | gweith-red-u |

XLI.

4. Cariad mwy na hwn nid oes gan neb; sef, bod i un roi ei einioes dros ei gyf-eill-ion. Canys yr hwn nid ad-na-bu bechod, a wnaeth efe yn bechod drosom ni; fel y'n gwnelid ni yn gyf-iawn-der Duw ynddo ef. Canys Crist pan oeddym ni eto yn weiniaid, mewn pryd a fu farw dros yr an-nuw-iol. Crist a'n llwyr brynodd odd-i-wrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith trosom.

XLII.

| | | |
|---|---|---|
| Gwen-yn-en | han-es-ydd | hen-ur-iad |
| gwi-al-en | hawdd-gar-wch | her-lod-es |
| gwin-llan-ydd | hedd-ych-u | hil-iog-aeth |
| gwir-ion-edd | hel-aeth-rwydd | hir-aeth-lawn |
| gwyb-od-aeth | hel-bul-us | hir-oed-i |
| Hael-ion-i | hel-wr-iaeth | hud-ol-es |
| hal-og-rwydd | hen-af-gwr | hust-ing-wr |

*Geiriau o dair Sill, a Darlleniad.*

XLIII.

| | | |
|---|---|---|
| Hwyr-fryd-ig | lladd-ed-ig | lle-ty-a |
| hys-bysi-ad | llaf-ar-u | llew-yg-u |
| Iach-awd-wr | llaf-ur-wr | llin-yn-au |
| ieu-enc-tid | lla-wen-ydd | lli-os-og |
| ir-eidd-dra | lla-wer-oedd | llon-ydd-wch |
| is-el-radd | llaw-for-wyn | llosg-ed-ig |
| Llad-rat-a | llef-ar-wr | lludd-ed-ig |

XLIV.

5. Yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom, i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd, ac i'n puro ni iddo ei hun, yn bobl briodol, awyddus i weithredoedd da. Yr hwn ei hun a ddug ein pechodau ni yn ei gorph ar y pren, fel, gwedi ein marw i bechodau, y byddem byw i gyfiawnder: trwy gleisiau yr hwn yr iachâwyd chwi. A Gwaed Iesu Grist ei Fab ef, sydd yn ein glanâu ni oddiwrth bob pechod.

XLV.

| | | |
|---|---|---|
| Llu-est-wr | mab-wys-iad | medd-w-dod |
| llun-iaeth-u | mach-lud-iad | mel-yn-ydd |
| llygr-ed-ig | madd-eu-ant | mell-dith-io |
| llyth-yr-en | mag-wr-iaeth | mes-ur-iad |
| llyw-iawd-wr | mal-ur-io | mil-wr-iaeth |
| llyw-odr-aeth | man-yl-rwydd | mol-iann-us |
| Mab-an-dod | marw-ol-aeth | myn-wes-ol |

## *Geiriau o dair Sill, a Darllenad.*

XLVI.

| | | |
|---|---|---|
| Nadd-ed-ig | Och-en-aid | Par-ad-wys |
| nef-ol-aidd | oer-leis-io | parch-ed-ig |
| neill-du-aeth | of-er-edd | pasg-ed-ig |
| new-id-iad | ofn-ad-wy | pech-ad-ur |
| new-yn-u | off-eir-iad | pell-en-ig |
| niw-eid-iol | ol-ew-wydd | pen-def-ig |
| nof-ied-ydd | ol-wyn-ion | pen-lin-io |

LXVII.

AM DDUWIOLDEB.

1. YM-AR-FER dy hun i dduw-iol-deb. Canys i ychydig y mae ym-ar-fer corph-or-ol yn fuddiol: eithr duw-iol-deb sydd fuddiol i bob peth, a chanddi addewid o'r bywyd sydd yr awr hon, ac o'r hwn a fydd. Ond elw mawr yw duw-iol-deb gyda bodd-lon-rwydd. Penaf peth yw doeth-in-eb: Cais ddoeth-in-eb; ac â'th holl gyfoeth, cais ddeall. Dyrch-af-a di hi, a hithau a'th ddyrch-af-a di.

LXVIII.

| | | |
|---|---|---|
| Pen-teu-lu | plent-yn-aidd | pryd-nawn-ol |
| pen-wyn-u | pobl-og-aeth | pysg-od-yn |
| per-ar-ogl | preg-eth-wr | Rhag-lun-iaeth |
| perch-en-og | pres-wyl-fa | rhag-rith-iwr |
| per-er-in | pri-od-as | rhan-dir-oedd |
| perth-yn-as | prof-ed-ig | rhed-eg-wr |
| plan-ig-yn | pro-phwyd-i | rhe-ol-aidd |

## *Geiriau o dair Sill, a Darlleniad.*

### XLIX.

| | | |
|---|---|---|
| Rhif-ed-i | rhy-fyg-us | sir-iol-deb |
| rhod-res-gar | Sab-bath-au | sych-ed-ig |
| Rhuf-ein-iaid | saf-ad-wy | syl-wedd-ol |
| rhwydd-in-eb | sant-eidd-iad | syn-wyr-ol |
| rhy-budd-io | sef-yll-fa | Taen-ell-u |
| rhy-fedd-ol | se-gur-yd | taf-od-au |
| rhy-fel-a | siar-ad-us | tal-iad-au |

### L.

2. Yr hwn y mae y Mab ganddo, y mae y bywyd ganddo; a'r hwn nid oes ganddo Fab Duw, nid oes ganddo fywyd. Yr hwn sydd yn credu ynddo ef, ni ddemnir; eithr yr hwn nid yw yn credu a ddamn-i-wyd eisoes. Yn wir, yn wir, meddaf i ti, odd-i-eithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw. Yr hyn a aned o'r cnawd, sydd gnawd; a'r hyn a aned o'r Ysbryd, sydd Ysbryd.

### LI.

| | | |
|---|---|---|
| Tang-nef-edd | ter-fysg-oedd | tru-gar-edd |
| tar-an-au | teu-lu-oedd | trys-or-au |
| tar-ian-au | teyrn-as-oedd | tu-fewn-ol |
| teg-an-au | tir-ion-deb | twyll-od-rus |
| teil-yng-dod | tost-ur-i | ty-lwyth-og |
| tel-yn-au | tra-gyw-ydd | tyr-fa-oedd |
| ter-fyn-au | tru-en-us | ty-wyll-wch |

## *Geiriau o dair Sill, a Darlleniad.*

### LII

| | | |
|---|---|---|
| Uf-ydd-dod | wyn-eb-au | ys-gafn-der |
| uff-ern-ol | wyth-nos-ol | ys-gar-iaeth |
| ug-ein-iau | Ym-ad-ael | ys-gog-iad |
| un-ig-ol | ym-ad-rodd | ys-gryth-yr |
| un-ion-deb | ym-deith-io | ys-gub-au |
| urdd-as-ol | ym-ladd-au | ys-gwydd-au |
| Wyl-of-ain | ys-bryd-ol | ys-tlys-au |

### LIII.

3. Gwyn ei fyd y dyn a gaffo ddoeth-in-eb, a'r dyn a ddygo ddeall allan. Ei ffyrdd hi sydd ffyrdd hyfrydwch, a'i holl lwybrau hi ydynt heddwch. Pren bywyd yw hi i'r neb a ymaflo ynddi: a gwyn ei fyd a ddalio ei afael ynddi hi. Cais ddoeth-in-eb, cais ddeall; na âd dros gôf, ac na wyra odd-i-wrth eiriau fy ngenau. Nac ymâd a hi, a hi a'th geidw: câr hi, a hi a'th wared di.

### EMYN.

Cofiwn ein Creawdwr da,
  Mewn ieuenctyd,
Canys dyfod diau wna,
  Dyddiau blinfyd:
Trist flynyddau diwedd oes,
  Heb hyfrydwch,
Yn y cyfryw rai nid oes,
  Dim dyddanwch.

J. H.

## *Geiriau o bedair Sill, a Darlleniad.*

### LIV.

Ad-eil-ad-u
ad-gen-edl-iad
ad-gy-fod-iad
ad-new-ydd-iad
af-lon-ydd-wch
af-re-ol-us
am-ddiff-yn-fa
a-myn-edd-gar
an-es-mwyth-der
an-ned-wydd-wch
an-rhyd-edd-us
arch-off-eir-iad
ar-fer-ed-ig
a-thraw-iaeth-au

### LV.

4. Os gwaeddi ar ol gwybodaeth, os cyfodi dy lef am ddeall; os ceisi hi fel arian, os chwili am dani fel am drysorau cuddiedig; Yna y cei ddeall ofn yr Arglwydd, ac y cei wybodaeth o Dduw. Canys yr Arglwydd sydd yn rhoi doethineb: allan o'i enau ef y mae gwybodaeth, a deall yn dyfod. Yna cyngor a'th gynnal, a synwyr a'th geidw.

### LVI.

Barn-ed-ig-aeth
bon-edd-ig-aidd
bren-in-iaeth-au
budd-yg-ol-iaeth
bw-bw-man-llyd
Cadw-ed-ig-aeth
can-mol-ad-wy
cen-ad-wr-i
cen-fig-en-us
coff-ad-wr-iaeth
coll-ed-ig-aeth
cyd-wyb-od-ol
cyf-new-id-iol
cy-medr-ol-deb

## *Geiriau o bedair Sill, a Darlleniad.*

### LVII.

| | |
|---|---|
| Cy-myd-og-ion | Dad-ym-chwel-yd |
| cyn-nef-in-ol | dae-ar-ol-deb |
| cyn-north-wy-ol | dar-llen-ydd-ion |
| cys-segr-ed-ig | dar-os-tyng-iad |
| cys-tudd-ied-ig | di-en-eid-io |
| cy-wil-ydd-us | di-frych-eu-lyd |
| chwar-e-ydd-iaeth | di-niw-eid-rwydd |

### LVIII.

#### AM FYRDRA YR EINIOES.

Dyn a aned o wraig sydd fyr o ddyddiau, a llawn o helbul. Fel blodeuyn y daw allan, ac y torir ef ymaith; ac efe a gilia fel cysgod, ac ni saif. Y rhai ni wyddoch beth a fydd y fory. Canys beth ydyw eich einioes chwi? Canys tarth ydyw, yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hyny yn diflanu.

### LIX.

| | |
|---|---|
| Dig-on-ol-deb | ef-eng-yl-wr |
| di-of-al-wch | eg-wydd-or-ion |
| di-o-gel-wch | eidd-ig-edd-us |
| di-wyg-iad-au | el-us-en-au |
| dy-o-ddef-aint | es-geu-lus-o |
| dysg-ed-ig-ion | e-tif-edd-ion |
| E-di-feir-wch | ew-yll-ys-gar |

## *Geiriau o bedair Sill, a Darlleniad.*

### LX.

Ffig-ys-bren-au
ffo-ad-ur-iaid
ffo-ed-ig-aeth
Gal-ar-nad-au
go-chel-iad-au
god-id-og-rwydd
god-in-eb-wr
gor-chym-yn-ion
gor-fol-edd-us
gor-sedd-feinc-iau
gor-uch-af-iaeth
grym-us-der-au
gwar-ed-ig-aeth
gwein-id-og-ion

### LXI.

AM ADGYFODIAD CRIST.

Yr Arglwydd a gyfododd yn wir. Yr hwn a gyfododd Duw o feirw, gan ryddâu gofidiau angeu: canys nid oedd bosibl ei attal ef ganddo. Yr Iesu hwn a gyfododd Duw i fynu; o'r hyn yr ydym ni oll yn dystion. A Thywysog y bywyd a laddasoch, yr hwn a gyfododd Duw o feirw; o'r hyn yr ydym ni yn dystion. Ac a gyfodwyd i'n cyfiawnâu ni.

### LXII.

Gwel-ed-ig-aeth
gwir-ion-edd-ol
gwrth-wyn-eb-wr
gwyn-fyd-ed-ig
Hal-og-ed-ig
han-es-ydd-iaeth
hwyr-fryd-ig-rwydd
Iach-awd-wr-iaeth
Lladd-ed-ig-aeth
lla-wen-ych-u
lli-os-og-rwydd
llygr-ed-ig-aeth
llyth-yr-en-au
llyw-odr-aeth-u

*Geiriau o bedair Sill, a Darlleniad.*

## LXIII.

| | |
|---|---|
| Madd-eu-gar-wch | Neg-es-wr-iaeth |
| march-nat-a-wr | neill-du-ed-ig |
| marw-ol-aeth-u | new-id-ied-ig |
| medd-yg-in-iaeth | Och-en-eid-iau |
| mell-dig-ed-ig | of-er-goel-us |
| mes-ur-ed-ig | off-eir-iad-aeth |
| my-fyr-dod-au | ol-ew-wydd-en |

## LXIV.

### AM ESGYNIAD CRIST.

Ac efe a'u dug hwynt allan hyd yn Bethania; ac a gododd ei ddwylaw, ac a'u bendithiodd hwynt. Ac fe a ddarfu, tra yr oedd efe yn eu bendithio hwynt, ymadael o hono ef oddi wrthynt; ac efe a ddygwyd i fynu i'r nef. A gymerwyd i fynu mewn gogoniant. Yr hwn sydd raid i'r nef ei dderbyn hyd amseroedd adferiad pob peth.

## LXV.

| | |
|---|---|
| Par-ad-wys-aidd | per-er-in-ion |
| parch-ed-ig-aeth | perth-yn-as-au |
| pasg-ed-ig-ion | poen-ed-ig-aeth |
| pech-ad-ur-iaid | prof-ed-ig-aeth |
| pen-def-ig-ion | pryn-ed-ig-aeth |
| pen-der-fyn-iad | Rhwym-ed-ig-aeth |
| pen-di-fadd-eu | rhy-fedd-od-au |

## *Geiriau o bedair Sill, a Darlleniad.*

### LXVI.

| | |
|---|---|
| Sant-eidd-ied-ig | tru-gar-edd-au |
| swyn-gy-far-edd | Uch-el-der-au |
| syl-faen-ed-ig | Ym-ad-rodd-us |
| Tal-ed-ig-aeth | ym-hel-aeth-u |
| tang-nef-edd-us | ys-bryd-ol-iaeth |
| teb-yg-ol-iaeth | ys-grif-en-wr |
| tost-ur-iaeth-au | ys-gryth-yr-au |

### LXVII.

AM EIRIOLAETH CRIST.

Am hyny efe a ddichon hefyd yn gwbl iachâu, y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw, gan ei fod ef yn byw bob amser i eiriol drostynt hwy. Ac o phecha neb, y mae i ni Eiriolwr gyda'r Tad, Iesu Grist y cyfiawn. Ac efe yw yr iawn dros ein pechodau ni; ac nid dros yr eiddom ni yn unig, eithr dros bechodau yr holl fyd. Ac a eiriolodd dros y troseddwyr.

---

### EMYN.

1 Fel Obadia dôd i mi,
Dy ofni yn fy ie'nctyd;
A gras i gadw gyda'th waith,
Yn berffaith ddyddiau 'mywyd.

2 Na âd fi ymfoddloni dim,
Heb feddu grym duwioldeb;
Ond yn fy ie'nctyd, Arglwydd, dôd,
Yr hynod ragoroldeb.

## *Geiriau o bum Sill.*

### LXVIII.

Ad-en-ed-ig-aeth
am-ryf-us-edd-au
an-ad-na-bydd-us
an-niff-odd-ad-wy
an-ny-chwel-ed-ig
an-rhyd-edd-us-af
arch-off-eir-iad-aeth
Barn-ed-ig-aeth-au
bon-edd-ig-eidd-rwydd
budd-yg-ol-iaeth-au
Coff-ad-wr-iaeth-au
cyf-eil-iorn-ad-au
cyf-new-id-iad-au
cyff-red-in-ol-rwydd
cy-mer-ad-wy-aeth
Dar-fod-ed-ig-aeth

### LXIX.

Dar-os-tyng-ed-ig
dy-chwel-ed-ig-ion
dy-odd-ef-gar-wch
Ei-lun-add-ol-iaeth
el-us-en-gar-wch
e-thol-ed-ig-aeth
ew-yll-ys-gar-wch
Gwar-ed-ig-aeth-au
gwas-an-aeth-ydd-ion
gwi-al-en-od-au
gwrth-ryf-el-gar-wch
gwyn-fyd-ed-ig-rwydd
Hal-og-ed-ig-aeth
Llygr-ed-ig-aeth-au
Prof-ed-ig-aeth-au
Tra-gy-wydd-ol-deb

### LXX.

## *Geiriau o chwech, a saith Sill.*

An-ew-yll-us-gar-wch
an-nheb-yg-ol-iaeth-ol
an-nif-lan-ed-ig-aeth
Cynt-af-an-ed-ig-aeth
Dad-gudd-ied-ig-aeth-au
dar-fod-ed-ig-aeth-au
Gwa-han-ed-ig-aeth-ol
goll-yng-ed-ig-aeth-au
Hal-og-ed-ig-aeth-au
hun-an-sy-mud-iad-au
Of-er-goel-ed-ig-aeth
Rhag-was-an-aeth-iad-au
Tra-llod-ed-ig-aeth-au
Ym-gyf-oeth-og-as-ant
ym-es-gus-od-iad-au
ys-grif-en-ed-ig-aeth-au

## LXXI.

### AM DDYDD Y FARN.

Canys rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist, fel y derbynio pob un y pethau a wnaethpwyd yn y corph; yn ol yr hyn a wnaeth, pa un bynag ai da ai drwg. Canys Duw a ddwg bob gweithred i farn, a phob peth dirgel. Gwybydd y geilw Duw di i'r farn am hyn oll. Am bob gair segur a ddywedo dynion, y rhoddant hwy gyfrif yn nydd y farn. Yn y dydd y barno Duw ddirgeloedd dynion, yn ol fy efengyl I, trwy Iesu Grist.

## LXXII.

### AM UFFERN.

Ar yr annuwiolion y gwlawia efe faglau, tân, a brwmstan, a phoeth-wynt ystormus: dyma ran eu phiol hwynt. A mŵg eu poenedigaeth sydd yn esgyn i fynu yn oes oesoedd; ac nid ydynt yn cael gorphwysdra ddydd na nos. Lle nid yw eu pryf hwynt yn marw, na'r tân yn diffodd. Ewch oddi wrthyf, rai melldigedig, i'r tân tragywyddol, yr hwn a barotowyd i Ddiafol a'i angylion. A'r rhai hyn a ânt i gospedigaeth dragywyddol; ond y rhai cyfiawn i fywyd tragywyddol.

## LXXIII.

### AM Y NEFOEDD.

Yn nhŷ fy Nhad y mae llawer o drigfanau; a phe amgen, mi a ddywedaswn i chwi; yr wyf fi yn myned i barotoi lle i chwi; ac os myfi a âf, ac a barotoaf le i chwi, mi a ddeuaf drachefn, ac a'ch cymeraf ataf fy hun; fel, lle yr wyf fi y byddoch chwithau hefyd. Canys ni a wyddom, os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddattodir, fod i ni adeilad gan Dduw, sef, tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd. Ni a wyddom pan ymddangoso efe, y byddwn gyffelyb iddo; oblegyd ni a gawn ei weled ef, megys ag y mae.

## Y SALM GYNTAF.

1. Gwyn ei fyd y gwr ni rodia yn nghyngor yr annuwiolion, ac ni saif yn ffordd pechaduriaid, ac nid eistedd yn eisteddfa gwatwarwyr.
2. Ond sydd â'i ewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd; ac yn myfyrio yn ei gyfraith ef ddydd a nos.
3. Ac efe a fydd fel pren wedi ei blanu ar lan afonydd dyfroedd, yr hwn a rydd ei ffrwyth yn ei bryd; a'i ddalen ni wywa, a pha beth bynag a wnel, efe a lwydda.
4. Nid felly y bydd yr annuwiol; ond fel mân ûs yr hwn a chwâl y gwynt ymaith.
5. Am hyny yr annuwiolion ni safant yn y farn, na phechaduriaid yn nghynnulleidfa y rhai cyfiawn.
6. Canys yr Arglwydd a edwyn ffordd y rhai cyfiawn; ond ffordd yr annuwiolion a ddyfethir.

## EMYN,

1. O cofiwn yn awr, yn nyddiau ieuengctyd,
Ein Crewr tra mawr, Cynnaliwr ein bywyd;
Cyn rhedeg ein hoes i'r dyddiau tra blinion,
Can's ynddynt nid oes ddyddanwch i ddynion:
Llafuriwn mewn pryd am gael y trysorau,
A bery cyhyd a'n gwerthfawr eneidiau.

2. Cyn profi cŵyn prudd adfeiliad ein natur,
Can's henaint a rydd wanhad i bob synwyr;
A chyn profi'r briw o dori'r colofnau,
Dewiswn y Duw a'n tywys trwy angeu;
Cael cyfaill a lŷn fydd werthfawr iawn yno,
Pan fyddo pob dyn heb fodd i'n cysuro.

3. A'r babell frau hon yn ol i'w hen bentwr,
A'r enaid ger bron Creawdydd a Barnwr;
'Mofynwn yn fawr yn moreu'n blynyddau,
Am nabod yn awr Waredwr eneidiau:
Gwell i ni na'r byd gael nabod yr Iesu,
Fe'n cynnal y pryd bydd natur yn pallu. J. H.

## SALM XXIII.

1. YR ARGLWYDD yw fy mugail; ni bydd eisieu arnaf.
2. Efe a wna i mi orwedd mewn porfeydd gwelltog: efe a'm tywys ger llaw y dyfroedd tawel.
3. Efe a ddychwel fy enaid; efe a'm harwain ar hyd llwybrau cyfiawnder, er mwyn ei enw.
4. Ië, pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angeu, nid ofnaf niweid; canys yr wyt ti gyda mi; dy wïalen a'th ffon a'm cysurant.
5. Ti a arlwyi ford ger fy mron yn ngwydd fy ngwrthwynebwyr: iraist fy mhen ag olew; fy phiol sydd lawn.
6. Daioni a thrugaredd yn ddiau a'm canlynant holl ddyddiau fy mywyd: a phreswyliaf yn nhŷ yr ARGLWYDD yn dragywydd.

## SALM C.

1. CENWCH yn llafar i'r ARGLWYDD, yr holl ddaear:
2. Gwasanaethwch yr ARGLWYDD mewn llawenydd; deuwch o'i flaen ef â chân.
3. Gwybyddwch mai yr ARGLWYDD sydd DDUW: efe a'n gwnaeth, ac nid ni ein hunain: ei bobl ef ydym, a defaid ei borfa.
4. Ewch i mewn i'w byrth ef â diolch, ac i'w gynteddau â mawl: diolchwch iddo, a bendithiwch ei enw.
5. Canys da yw yr ARGLWYDD: ei drugaredd sydd yn dragywydd; a'i wirionedd hyd genedlaeth a chenedlaeth.

## SALM CXVII.

1. MOLWCH yr ARGLWYDD, yr holl genedloedd: clodforwch ef, yr holl bobloedd.
2. Oherwydd ei drugaredd ef tuag atom ni sydd

fawr: a gwirionedd yr ARGLWYDD a bery yn dragywydd. Molwch yr ARGLWYDD.

## SALM CXXX.

1. O'R dyfnder y llefais arnat, O ARGLWYDD.
2. ARGLWYDD, clyw fy llefain; ystyried dy glustiau wrth lef fy ngweddiau.
3. Os creffi ar anwireddau, ARGLWYDD: O ARGLWYDD, pwy a saif?
4. Ond y mae gyda thi faddeuant, fel y'th ofner.
5. Dysgwyliaf am yr ARGLWYDD: dysgwyl fy enaid; ac yn ei air ef y gobeithiaf.
6. Fy enaid sydd yn dysgwyl am yr ARGLWYDD yn fwy nag y mae y gwyl-wyr am y boreu; yn fwy nag y mae y gwyl-wyr am y boreu.
7. Dysgwylied Israel am yr ARGLWYDD: o herwydd y mae trugaredd gyda'r ARGLWYDD, ac aml ymwared gydag ef.
8. Ac efe a wared Israel oddiwrth eu holl anwireddau.

## SALM CXXXIV.

1. WELE, holl weision yr ARGLWYDD, bendithiwch yr ARGLWYDD; y rhai ydych yn sefyll yn nhŷ yr ARGLWYDD y nos.
2. Dyrchefwch eich dwylaw yn y cysegr; a bendithiwch yr ARGLWYDD.
3. Yr ARGLWYDD yr hwn a wnaeth nefoedd a daear, a'th fendithio di allan o Sïon.

---

## EMYN.

O deuwch ie'nctyd hyfryd 'nawr,
I ganmol eich Creawdwr mawr,
Ar Frenin Sïon rhowch eich bryd,
A llafar genwch iddo gyd.

## Y DEG GORCHYMYN.

A Duw a lafarodd yr holl eiriau hyn, gan ddywedyd. Myfi yw yr Arglwydd dy Dduw, yr hwn a'th ddug di allan o wlad yr Aipht, o dŷ y caethiwed.

I. Na fydded i ti dduwiau ereill ger fy mron I.

II. Na wna i ti ddelw gerfiedig, na llun dim a'r y sydd yn y nefoedd uchod, nac a'r y sydd yn y ddaear isod, nac a'r sydd yn y dwfr tan y ddaear. Nac ymgryma iddynt, ac na wasanaetha hwynt: oblegyd myfi yr Arglwydd dy Dduw, wyf Dduw eiddigus; yn ymweled âg anwiredd y tadau ar y plant, hyd y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth o'r rhai a'm casânt; ac yn gwneuthur trugaredd i filoedd o'r rhai a'm carant, ac a gadwant fy ngorchymynion.

III. Na chymer enw yr Arglwydd dy Dduw yn ofer: canys nid dieuog gan yr Arglwydd yr hwn a gymero ei enw ef yn ofer.

IV. Cofia y dydd Sabbath, i'w santeiddio ef. Chwe' diwrnod y gweithi, ac y gwnai dy holl waith; ond y seithfed dydd yw Sabbath yr Arglwydd dy Dduw: na wna ynddo ddim gwaith, tydi, na'th fab, na'th ferch, na'th wasanaethwr, na'th wasanaethferch, na'th anifail, na'th ddyeithr ddyn a fyddo o fewn dy byrth. Oherwydd mewn chwe' diwrnod y gwnaeth yr Arglwydd y nefoedd a'r ddaear, y môr, a'r hyn oll sydd ynddynt, ac a orphwysodd y seithfed dydd: am hyny y bendithiodd yr Arglwydd y dydd Sabbath, ac a'i santeiddiodd ef.

V. Anrhydedda dy dad a'th fam, fel yr estyner dy ddyddiau ar y ddaear, yr hon y mae yr Arglwydd dy Dduw yn ei rhoddi i ti.

VI. Na ladd.

VII. Na wna odineb.

VIII. Na ladrata.

IX. Na ddwg gam-dystiolaeth yn erbyn dy gymydog.

X. Na chwennych dŷ dy gymydog, na chwennych wraig dy gymydog, na'i wasanaethwr, na'i wasanaethferch, na'i ŷch, na'i asyn, na dim a'r sydd eiddo dy gymydog.

## GWEDDI YR ARGLWYDD.

EIN Tad, yr hwn wyt yn y nefoedd ; santeiddier dy enw. Deued dy deyrnas. Bydded dy ewyllys ar y ddaear megys y mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ni i'n dyledwyr. Ac nac arwain ni i brofedigaeth, eithr gwared ni rhag drwg. Canys eiddot ti yw'r deyrnas, a'r gallu, a'r gogoniant, yn oes oesoedd. Amen.

## NODAU RHIFYDDIAETH.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Un | I | 1 | Deuddeg | XX | 20 |
| Dau | II | 2 | Trideg | XXX | 30 |
| Tri | III | 3 | Pedwardeg | XL | 40 |
| Pedwar | IV | 4 | Pumpdeg | L | 50 |
| Pump | V | 5 | Chwechdeg | LX | 60 |
| Chwech | VI | 6 | Saithdeg | LXX | 70 |
| Saith | VII | 7 | Wythdeg | LXXX | 80 |
| Wyth | VIII | 8 | Nawdeg | XC | 90 |
| Naw | IX | 9 | Cant | C | 100 |
| Deg | X | 10 | Dau cant | CC | 200 |
| Degun | XI | 11 | Tri chant | CCC | 300 |
| Degdau | XII | 12 | Pedwar cant | CCCC | 400 |
| Degtri | XIII | 13 | Pump cant | D | 500 |
| Degpedwar | XIV | 14 | Chwech cant | DC | 600 |
| Degpump | XV | 15 | Saith cant | DCC | 700 |
| Degchwech | XVI | 16 | Wyth cant | DCCC | 800 |
| Degsaith | XVII | 17 | Naw cant | DCCCC | 900 |
| Degwyth | XVIII | 18 | Mil | M | 1000 |
| Degnaw | XIX | 19 | Can' mil | CM | 100,000 |

## AM Y LLYTHYRENAU ANMHRIODOL I'R GYMRAEG;

Y RHAI A ARFERIR MEWN RHAI

## GEIRIAU NEU ENWAU PRIODOL.

---

Y LLYTHYRENAU ydynt *J*, *K*, *Q*, *X*, *Z*.

Nid ydynt briodol i'r iaith Gymraeg, ac nid oes angen am danynt; eto arferir hwynt yn rhai argraffiadau o'r Beibl, mewn geiriau o ieithoedd eraill; ond mewn argraffiadau eraill arferir *I* yn lle *J*; *C* yn lle *K*; *Cw* yn lle *Q*; *Cs* yn lle *X*; ac *S* yn lle *Z*.

Arferir* seiniaw amryw enwau priodol yn ol y dull cyffredinol; neu yn ol dull ein cymydogion y Saeson; ac nid yn ol priodol sain y llythyrenau cymreig; efallai mae hyny hefyd sydd oreu, er mwyn bod yn un-ffurf; gan mae geiriau o ieithoedd eraill ydynt: o ganlyniad pe seinid y llythyrenau yn gymreigaidd; ni byddid ddim yn nes i ddeall gwir ystyr y geiriau hyny; nac i siarad y gymraeg wrth wneuthur felly.

—o—

## AM Y PWYSLAIS.

MEGYS mai *Aceniad* yw gosod y llais yn fwy pwysig a grymus, ar ryw lythyren neu sill mewn *gair*; felly *Pwyslais* yw gosod y llais yn fwy grymus ar ryw air enwedigol mewn *ymadrodd:* yr hyn a ddengys degwch, bywiogrwydd, ac ystyr yr ymadrodd yn amlycach.

Cynygir y cyfarwyddiadau canlynol, er ei iawn roddi.

1. Dylid deall natur a dyben yr attal-nodau, a sylwi arnynt wrth ddarllen. Wrth esgeuluso hyn, y

---

* Gwel Sillydd Cymraeg y Parch. T. Charles, tudal. 62.

mae rhai wedi darllen weithiau yn dra chyfeiliornus: fel yr oedd rhyw un yn ddiweddar yn darllen, 'Fel yr ufyddhaodd Sara i Abraham, gan ei alw ef yn *arglwydd merched;*' yn lle 'gan ei alw ef yn arglwydd; merched yr hon ydych chwi, &c.'

2. Dylid darllen holiad neu ofyniad, mewn dull holiadol; wrth beidio gwneuthur felly, gwneir cam yn fynych â meddwl yr awdwr; megys yn y rhan olaf, a'r gair olaf o'r 15 Adn. o'r 63 o Esay. Byddai ei ddarllen, heb fod mewn dull holiadol, yn haeru fod sêl, a chadernid, a lliosawgrwydd tosturiaethau a thrugareddau Duw, tuag at ei bobl, wedi ymattal; yr hyn fyddai yn gyfeiliornus iawn.

3. Gosodir y pwyslais mewn holiad, ar y gair y byddo yr holiedydd am ei wybod yn neillduol; megys, *Pwy* a'ch gwnaeth chwi? yma y gwelir yn eglur fod y pwys ar y gair, *Pwy;* o herwydd yr ateb yw, *Duw.* Pwy oedd y dyn *cyntaf?* yma dodir y pwyslais ar y gair *cyntaf;* o herwydd yr ateb yw, *Adda.*

4. Dylid llafurio i deall pa beth yw prif fwriad, ac amcan pennaf yr ysgrifenydd, a'r gair a gynnwys hyny, yw y pwysig-air, bob amser.

5. Ni ddylid, yn gyffredin, osod pwys ar yr un gair, ragor nag unwaith, mewn ymadrodd; onide, bydd y gwrandawydd yn ystyried yr un peth hwnw megys dau: megys am y wraig rinweddol, yn Diar. 31., ni ddylid rhoddi y pwys ar y rhagenw, *Hi;* ond ar y geiriau sydd ar ei ol, y rhai a amlygant ei gweithredoedd rhinweddol.

6. Mae rhai ymadroddion mor bwysfawr a chyflawn, fel y dylid dodi pwys ar amryw eiriau; megys, *Pa lesâd i ddyn os ennill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?*

7. Mae iawn neu gam osodiad y pwyslais, yn newid ystyr ymadrodd; megys y gwelir yn yr angraifft ganlynol, "A ai di gyda'r gwr hwn?"

1. Os dodir y pwys ar *ai*, yr ateb raid fod, *âf*, neu, *nid âf*.

2. Os ar *di*, yr ateb ddichon fod, nid âf *fi*, ond fy *chwaer* a â.

3. Os ar *gyda*, yr ateb ddichon fod, gwell genyf fyned fy *hun*.

4. Os ar *gwr hwn*, yr ateb ddichon fod, gydag arall yr wyf yn ewyllysio myned, neu fel Rebeca, *Af*, sef, gyda'r *gwr hwn*.

---

## AM WAHANNODIAD.

Gwahannodiad yw dosbarthiad yr hyn a ysgrifener, trwy nodau gwahaniadol, er mwyn deall a darllen yr unrhyw. Y mae chwech o honynt yn cael eu defnyddio, y rhai a ddarlunir, ac a enwir fel y canlyn:—

1. Y Rhagwahannod (,) yr hwn yw y lleiaf o'r attal-nodau, ac a ddefnyddir rhwng mân gymalau brawddeg, ac ar ol geiriau o'r un rhan-ymadrodd; megys, "*Ffrwyth yr Ysbryd yw cariad, llawenydd, tangnefedd, hirymaros*," &c. Y nôd hwn, yn enwedig pan fyddo yr ymadrodd yn faith, a oddef ychydig o godiad yn y llais, a gorphwysiad tra y rhifir *un*.

2. Y Gwahannod (;) neu yr Haner-Dryll-ymadrodd, pa un a wahana ymadrodd cyfansawdd yn ddau, neu fwy o ranau; ond nid mor agos a'r Rhagwahannod; nac mor berffaith-gwbl a'r Gorwahannod; eithr a arferir pan fyddo un rhan o'r ymadrodd ar ol; megys, "*Edifarhewch; canys nesâodd teyrnas nefoedd*." Cedwir y llais yn ddiysgog wrth y nôd hwn, a gorphwysir tra y rhifir *dau*.

3. Y Gorwahannod (:) neu y Dryll-ymadrodd, yr hwn a arferir pan fyddo y rhan flaenorol o'r ymadrodd mewn perffaith gyfansoddiad; ond eto,

y mae yn gadael meddwl y darllenydd mewn dysgwyliad am ryw chwanegiad; megys, "*Balchder sydd yn myned o flaen dinystr : ac uchder ysbryd o flaen cwymp.*" Gellir gostwng ychydig wrth yr attal-nod hwn, a gorphwys tra y rhifir *tri.*

4. DIWEDDNOD (.) neu PERFFEITHNOD, a arferir ar ol ymadrodd cyflawn o synwyr, ac annibynol ar ymadroddion amgylchiadol; megys, "Perchwch bawb. Cerwch y brawdoliaeth. Ofnwch Dduw. Anrhydeddwch y brenin." Gostyngir y llais wrth yr attal-nod hwn, cyn ised ag y deallo y gwrandawydd fod yr ymadrodd blaenorol wedi ei gwbl orphen; a gellir gorphwys tra y rhifir *pedwar.*

5. GOFYN-NOD ( ? ) neu nôd o holedigaeth; yr hwn a arferir ar ol holiad neu ofyniad; megys, *Pwy wyt ti?* &c. Dylid attal y llais wrth y nôd hwn, fynychaf, cyhyd a'r diweddnod; a dangos, trwy godiad a bywiogrwydd y sain, mai holiad a fydd y geiriau; a dylai'r pwyslais fod ar y gair hwnw yn yr holiad i ba un y perthyn yr ateb.

6. RHYFEDDNOD ( ! ) a ddodir ar ol ymadroddion o ryfeddod, neu syndod aruthrol; megys, "*Pa fodd y mae y ddinas aml ei phobl, yn eistedd ei hunan!*" "*O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw!*" Gorphwysir wrth y nôd hwn yn nghylch cyhyd a'r diweddnod, a dylai y llais fod yn bwysig, yn gyfatebol i anian yr ymadrodd.

---

## ARWYDD-NODAU.

1. SILLGOLL ( ' ) a arferir pan fyddo llythyren o sill, neu sill o air wedi ei adael allan; megys, *i'n* yn lle *i ein; gwas'naethu* yn lle *gwasanaethu.*

2. CYSYLLTNOD ( - ) a arferir i gysylltu dau air a'u gilydd; megys, *Priod-fab, Llaeth-oen.*

3. DIDOLNOD (¨) a ddodir uwch ben llafariad i'w didoli, i ffurfio sill gwahanol ; megys, *Rhëol, tëyrn, ïe.*

4. ACEN DDYRCHAFEDIG (´), a ddodir uwchben llafariad, i arwyddo sain ddyrchafedig, cyflym, a grymus ; megys, *Cán, glán, llén.*

5. ACEN AMGYLCHEDIG, neu GORDDIGAN (^) a ddodir uwch ben llafariad, i arwyddo sain hirllaes ; megys, *Glân, môr, tân.*

6. YMSANG ( ) a CHROMFACHAU [ ], a arferir i gau i mewn air neu ymadrodd, a ellid ei adael allan heb niweidio y synwyr ; megys, *Mi a wn nad oes ynof fi (hyny yw yn fy nghnawd I) ddim da yn trigo.* Dylid darllen yr ymadrodd rhwng yr ymsangau ychydig yn îs, a chyflymach na'r draith yn gyffredin.

7. GWAHANRAN-NOD (¶) sydd yn nôd o wahanol fater ; ac a arferir yn fynych yn yr ysgrythyrau.

8. DOSPARTHNOD (§) sydd yn nodi gwahanol ranau yr un traethawd ar yr un mater.

9. DIFFYG-LIN (——), a arferir i arwyddo fod yr awdwr wedi gadael allan ryw ran o'i gyfansoddiad, gan gymeryd yr hyn a farnodd efe yn fwyaf angenrheidiol.

10. RHAGWAHANDRO, neu BRAWFNODIAD (" ") sydd yn arwyddo dyfnnodiad air yn ngair, allan o waith awdwr arall.

11. GWALLNOD (‸), a arferir pan adawo yr ysgrifenydd lythyren, sill, neu air, allan o ymadrodd ; megys,

dyn<br>
"Nid da bod y‸ei hunan."

12. Y Seren (*), y Bidag (†), y Bêr (‡), a'r Rheol ddwyblyg (‖), ydynt oll yn cyfeirio at ryw beth ar ymyl, neu yn ngwaelod y ddalen.

13. MYNEGFYS (☞) sydd yn cyfeirio at ryw beth tra nodedig.

14. CYPLYSNOD (‿⁀‿) a arferir i gydio geiriau neu linellau yn nghyd.

15. Amrai *sêr* fel hyn * * * *, sydd yn arwyddo fod ychwaneg i'w hysbysu; ond fod yr awdwr yn gweled yn addasach i beidio.

---

## NODIAD BYR AM RAMADEG.*

GRAMADEG ydyw y Gelfyddyd o ymadroddi ac ysgrifenu unrhyw iaith yn gywir.

Fe'i dosberthir i bedair rhan, sef, LLYTHYRAETH, GEIRYDDIAETH, CYSTRAWIAETH, a THONYDDIAETH.

1. LLYTHYRAETH sydd yn dangos natur a gallu llythyrenau, a'r iawn drefn o silliadu geiriau.

2. GEIRYDDIAETH sydd yn traethu am amrywiol fath o eiriau, eu gwahanol ddull, a'u tarddiadau.

Y mae wyth o ranau ymadrodd yn yr Iaith Gymraeg; sef, *Bannod*, *Enw*, *Rhagenw*, *Prifair*, *Gorair*, *Arddodair*, *Cysylltair*, a *Chyfryngair*.

3. CYSTRAWIAETH a hyfforddia i iawn drefnu geiriau mewn ymadrodd.

4. TONYDDIAETH a gynnwys *Aceniad*, *Pwyslais*, *Gostegau*, a *Goslef*.

* Holl ddyben y nodiad byr uchod, yw codi awydd mewn ieuenctyd am gael GRAMADEG CYMRAEG; megys eiddo Mr. ISAAC JONES, Athraw Ysgol Ramadegol Aberystwyth; neu un y Parch. J. PARRY, Caerlleon, &c., &c., &c. Dymunol fyddai i bob darllenwr i fod hefyd yn ramadegwr.

TERFYN.

---

CAERFYRDDIN: ARGRAFFWYD GAN M. JONES.

